ico. Information Commissioner's Office



# Deddf Rhyddid Gwybodaeth 2000

# Dogfen ddiffinio i Gyrff Iechyd yng Nghymru (gan gynnwys Byrddau Iechyd Lleol ac ymddiriedolaethau'r GIG)

Mae'r canllawiau hyn wedi'u hysgrifennu i'w defnyddio gan Gyrff Iechyd yng Nghymru. Maen nhw'n rhoi enghreifftiau o'r mathau o wybodaeth y mae'r ICO yn disgwyl ichi eu darparu er mwyn cyflawni'ch ymrwymiadau o dan y cynllun cyhoeddi enghreifftiol.

Byddai'r ICO yn disgwyl ichi drefnu bod yr wybodaeth yn y ddogfen ddiffinio hon ar gael oni bai:

- nad yw'r wybodaeth gennych;
- bod yr wybodaeth wedi'i hesemptio o dan un o esemptiadau Deddf Rhyddid Gwybodaeth 2000 (Deddf 2000) neu un o eithriadau Rheoliadau Gwybodaeth Amgylcheddol 2004 (EIR), neu y gwaherddir ei rhyddhau o dan statud arall (ee Rheoliad Cyffredinol y DU ar Ddiogelu Data);
- bod yr wybodaeth ar gael yn rhwydd ac yn gyhoeddus oddi ar wefan allanol. Efallai bod yr wybodaeth honno wedi'i darparu gennych chi neu ar eich rhan. Rhaid ichi ddarparu dolen uniongyrchol i'r wybodaeth honno;
- bod yr wybodaeth wedi'i harchifo, yn hen neu fel arall yn anhygyrch; neu
- y byddai paratoi'r deunydd i'w ryddhau fel rhan o'r drefn yn anymarferol neu'n ddwys o ran adnoddau.

Os yw'r wybodaeth yn cael ei dal gan awdurdod cyhoeddus arall, dylech roi manylion ynghylch ble i'w chael.

Nid yw'r canllawiau wedi'u bwriadu i roi rhestr gynhwysfawr o bopeth a ddylai gael ei gynnwys mewn cynllun cyhoeddi. Mae'r ymrwymiad cyfreithiol yn ymwneud â'r cynllun cyhoeddi enghreifftiol, a dylech geisio darparu cymaint o wybodaeth â phosibl fel rhan o'r drefn.

Mae'r ICO yn cydnabod bod y ddogfen hon yn rhychwantu amrywiaeth o sefydliadau sy'n cyflawni swyddogaethau gwahanol.

Er hynny, bydd yr wybodaeth sydd ganddyn nhw yn dod o dan yr un penawdau.

Mae'r ICO yn disgwyl ichi ddarparu o leiaf wybodaeth sy'n ofynnol o dan statudau neu gan Lywodraeth Cymru.

**Cyhoeddi setiau data i gael eu hailddefnyddio**

Yn rhinwedd eich swydd fel awdurdod cyhoeddus, mae'n rhaid ichi gyhoeddi o dan eich cynllun cyhoeddi unrhyw set ddata sydd gennych ac y gofynnwyd amdani, ynghyd ag unrhyw fersiynau wedi'u diweddaru, oni bai eich bod yn fodlon nad yw'n briodol gwneud hynny. Cyn belled ag y bo'n rhesymol ymarferol, rhaid ichi ei chyhoeddi ar ffurf electronig sy’n gallu cael ei hailddefnyddio.

Os yw'r set ddata neu unrhyw ran ohoni yn waith hawlfraint perthnasol ac os chi yw'r unig berchennog, mae’n rhaid ichi drefnu ei bod ar gael i'w hailddefnyddio o dan delerau trwydded benodol. Nid yw setiau data y mae'r hawlfraint neu’r hawliau cronfa ddata ynddyn nhw yn perthyn i’r Goron yn weithiau hawlfraint perthnasol.

Mae Cod Ymarfer Adran 45 2018 yn argymell y dylai awdurdodau cyhoeddus drefnu bod setiau data ar gael i’w hailddefnyddio o dan y Drwydded Llywodraeth Agored.

Mae’r term “dataset” wedi’i ddiffinio yn adran 11(5) o Ddeddf 2000. Mae’r termau “relevant copyright work” a “specified licence” wedi’u diffinio yn adran 19(8) o Ddeddf 2000. Mae’r ICO wedi cyhoeddi canllawiau ar setiau data (adrannau 11, 19 a 45). Mae’r canllawiau hynny’n esbonio ystyr “not appropriate” a “capable of re-use.

**Cynllun cyhoeddi enghreifftiol**

Mae'r tabl isod yn nodi'r wybodaeth benodol y mae'r ICO yn disgwyl ichi ei chyhoeddi o dan bob un o'r saith dosbarth gwybodaeth a nodir yn y cynllun cyhoeddi enghreifftiol.

## Dosbarth 1 – Pwy ydyn ni a beth wnawn ni

Gwybodaeth am y sefydliad, ei strwythurau, ei leoliadau a'i gysylltiadau.

Yr wybodaeth yn y dosbarth hwn i fod yn wybodaeth gyfredol yn unig

- **Sut rydyn ni'n ffitio yn strwythur y GIG**

O gofio natur y GIG, rhowch wybodaeth sy'n esbonio sut mae'r sefydliad yn ffitio yn strwythur lleol a/neu genedlaethol y GIG. Rhowch amlinelliad yn ogystal â gwybodaeth fanwl am eich rôl a'ch cyfrifoldebau.

- **Strwythur y sefydliad**

Gwybodaeth am lywodraethiant corfforaethol gan gynnwys manylion aelodau'r bwrdd a phersonél allweddol eraill. Cynhwyswch esboniad o'ch strwythur mewnol, sut mae'r strwythur yn cyd-berthyn i rolau a chyfrifoldebau a manylion unrhyw bwyllgor a/neu bartneriaeth.

- **Adroddiadau ar y bwlch cyflog rhwng y rhyweddau**

Darllenwch ganllawiau'r Llywodraeth ar adroddiadau ar y bwlch cyflog rhwng y rhyweddau i weld pa wybodaeth y mae angen ichi ei chyhoeddi. Cyhoeddwch y data hwn yn flynyddol os yw nifer eich staff yn 250 neu fwy.

- **Amrywiaeth y gweithlu**

Cyhoeddwch fanylion am gyfansoddiad eich gweithlu.

- **Rhestrau o'r sefydliadau allweddol rydych chi'n gweithio mewn partneriaeth â nhw, a gwybodaeth amdanyn nhw**

Rhowch ddigon o fanylion i sicrhau bod yr wybodaeth yn ddigon i nodi'r berthynas rhyngoch chi a'r cyrff hyn.

- **Cyfarfodydd â chwmnïau fferyllol a chyflenwyr meddygol eraill**

Cynhwyswch o leiaf enw'r cwmni, y dyddiad ac, os yw'n briodol, enw'r aelod(au) o’r staff a fu’n bresennol, ynghyd â syniad cyffredinol o gategori’r cyfarfod, er enghraifft marchnata neu hyrwyddo. Dylai enwau'r staff a fu'n bresennol gynnwys unrhyw uwch reolwyr ac unrhyw staff sydd â chymwysterau meddygol.

- **Uwch staff ac aelodau’r bwrdd**

Rhowch enwau a chyfrifoldebau a manylion bywgraffyddol y rhai sy'n gwneud penderfyniadau strategol a gweithredol am eich darpariaeth
gwasanaethau. Dim ond yn unol â GDPR y DU y dylech chi gyhoeddi manylion bywgraffyddol nad ydyn nhw’n gysylltiedig â gwaith.

- **Lleoliad a manylion cysylltu’r holl adrannau sy'n wynebu'r cyhoedd**

Os oes modd, rhowch enwau’r cysylltiadau yn ychwanegol at rifau ffôn a chyfeiriadau ebost.

## Dosbarth 2 - Faint rydyn ni’n ei wario a sut

Gwybodaeth ariannol ynghylch yr incwm a’r gwariant a ragwelir a’r incwm a’r gwariant gwirioneddol, caffael, contractau ac archwiliadau ariannol

Trefnwch fod gwybodaeth ariannol ar gael am y flwyddyn ariannol bresennol a’r un flaenorol o leiaf, oni nodir yn wahanol. Rhowch yr wybodaeth hon yn ei chyfanrwydd ond hefyd, lle bo'n briodol, ar gyfer cyfarwyddiaethau neu adrannau fel unedau cost.

- **Datganiadau ariannol, cyllidebau ac adroddiadau ar amrywiannau**

Ar y cyd â chyfrifon blynyddol, rhowch wybodaeth ariannol sy’n ddigon manwl i ganiatáu i'r cyhoedd weld ble rydych chi’n gwario arian neu ble rydych chi’n bwriadu ei wario, a'r gwahaniaeth rhwng y ddau.

Cyhoeddwch wybodaeth ariannol o leiaf bob blwyddyn ond, lle bo hynny'n ymarferol, darparwch adroddiadau ariannol bob hanner blwyddyn neu bob chwarter. Cynhwyswch gyllidebau refeniw a chyllidebau ar gyfer gwariant cyfalaf.

Rhowch fanylion eitemau gwariant dros £30,000, gan gynnwys gwybodaeth am gostau, cyflenwyr a thrafodiadau (misol).

- **Adroddiadau ar archwiliadau ariannol**
- **Rhaglen gyfalaf**
- **Cynllun dirprwyo**

Trefnwch fod gwybodaeth ar gael am gynlluniau mawr ar gyfer gwariant cyfalaf gan gynnwys unrhyw gontractau partneriaeth cyhoeddus-preifat.

- **Lwfansau a threuliau uwch staff ac aelodau'r bwrdd**

Rhowch fanylion y lwfansau a'r treuliau y gellir eu hysgwyddo neu eu hawlio. Cynhwyswch gyfanswm y lwfansau a'r treuliau a ysgwyddwyd gan aelodau unigol o’r uwch staff ac aelodau’r bwrdd rheoli neu a dalwyd iddyn nhw drwy gyfeirio at gategorïau. Lluniwch y categorïau hyn yn unol â’ch polisïau, eich arferion a’ch gweithdrefnau, a chynhwyswch deithio, cynhaliaeth a llety.

- **Cyflogau a strwythurau graddio’r staff**

Gallwch ddarparu hyn fel rhan o'ch strwythur sefydliadol. Cynhwyswch fanylion cyflogau’r staff uwch mewn bandiau o £5,000 o leiaf. Yn achos pob swydd arall, nodwch lefelau’r tâl yn ôl ystod y cyflog

Y ‘lluosrif tâl’ – y gymhareb rhwng y cyflog uchaf sy’n cael ei dalu a chyflog cyfartalog canolrifol eich gweithlu cyfan.

- **Cyllid (gan gynnwys cronfeydd gwaddol a chronfeydd elusennol)**
- **Gweithdrefnau caffael a thendro**

Rhowch fanylion y gweithdrefnau a ddefnyddir i gaffael nwyddau a gwasanaethau.

- **Manylion contractau sy’n cael eu tendro ar hyn o bryd**

Cynhwyswch o leiaf hysbysebion y contractau sydd ar gael i’w tendro’n gyhoeddus ar hyn o bryd.

- **Rhestr o gontractau a ddyfarnwyd a'u gwerth**

Yn gyffredinol, cyhoeddwch fanylion contractau a gwahoddiadau i dendro sy’n werth dros £25,000 yn unig, neu rhowch ddolen i'r wybodaeth hon ar wefan gaffael Llywodraeth Cymru.

## Dosbarth 3 - Beth yw’n blaenoriaethau a sut rydyn ni’n dod ymlaen

Strategaethau a chynlluniau, dangosyddion perfformiad, archwiliadau, arolygiadau ac adolygiadau

- **Adroddiad blynyddol**
- **Cynllun busnes blynyddol, gan gynnwys comisiynu**
- **Targedau, nodau ac amcanion**
- **Fframwaith Safonau Iechyd a Gofal**
- **Dogfen Cyfeiriad Strategol (cynllun 5 mlynedd)**
- **Perfformiad yn erbyn targedau/KPI/gwybodaeth rheoli perfformiad**
- **Adroddiadau ansawdd a diogelwch, gan gynnwys adroddiadau gan gyrff rheoleiddio (ee Arolygiaeth Gofal Iechyd Cymru)**
- **Datganiad Ansawdd Blynyddol**
- **Datganiad Llywodraethiant Blynyddol**
- **Adroddiadau Cyflog Cyfartal**
- **Adroddiad Egwyddorion ar Waith Caldicott (CPiP)**
- **Adroddiadau archwilwyr**
- **Archwiliadau clinigol**
- **Arolygon defnyddwyr gwasanaethau**
- **Cynllun Gwasanaethau Clinigol, os yw'n gymwys**
- **Strategaeth Cyfathrebu ac Ymgysylltu (os oes un)**
- **Asesiadau o'r effaith ar ddiogelu data (ar ffurf lawn neu grynodeb) neu unrhyw asesiad effaith arall (ee Asesiadau o'r Effaith ar Iechyd a Diogelwch, Asesiadau o'r Effaith ar Gydraddoldeb etc), fel y bo'n briodol ac yn berthnasol**
- **Llesiant**

  Os yw’n gymwys i chi, cyhoeddwch eich amcanion llesiant, datganiad am eich amcanion llesiant ac adroddiad blynyddol ar y cynnydd a wnaed o ran cyflawni'r amcanion hynny, fel sy'n ofynnol o dan Ddeddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) 2015.

## Dosbarth 4 – Sut rydyn ni'n gwneud penderfyniadau

Prosesau penderfynu a chofnodi penderfyniadau

Trefnwch fod gwybodaeth yn y dosbarth hwn ar gael am o leiaf y flwyddyn bresennol a'r tair blaenorol. Os gallwch chi drefnu bod gwybodaeth ar gael am fwy o amser, eglurwch hyn mewn unrhyw ganllawiau y byddwch yn eu cynhyrchu.

- **Papurau'r bwrdd – agenda, papurau ategol a chofnodion**

Cynhwyswch gofnodion y bwrdd, cofnodion o'r holl gyfarfodydd lefel uchel lle gwneir penderfyniadau ynghylch darparu gwasanaethau yn ogystal â dogfennau a phapurau ategol a drafodir yn y cyfarfodydd hyn. Peidiwch â chynnwys deunydd y bernir ei bod yn briodol ei esemptio rhag cael ei ddatgelu.

- **Strategaeth ymgysylltu â chleifion a'r cyhoedd**
- **Ymgyngoriadau cyhoeddus (er enghraifft, ynghylch cau/amrywio gwasanaethau)**

Darparwch fanylion ymarferion ymgynghori a mynediad i'r papurau ymgynghori, neu wybodaeth am ble i gael y papurau. Cynhwyswch ganlyniadau ymarferion ymgynghori.

- **Canllawiau ar gyfathrebu mewnol a meini prawf a ddefnyddir ar gyfer gwneud penderfyniadau, hynny yw systemau'r broses a'r personél allweddol**

Trefnwch fod cyfarwyddiadau, llawlyfrau a chanllawiau mewnol ar ymdrin â busnes yr awdurdod ar gael yn rhwydd, pan fyddai mynediad at yr wybodaeth honno'n helpu'r cyhoedd i ddeall sut mae penderfyniadau'n cael eu gwneud. Nid yw hyn yn cynnwys datgelu gwybodaeth a allai niweidio'ch gweithrediadau.

## Dosbarth 5 - Ein polisïau a'n gweithdrefnau

Y protocolau, y polisïau a'r gweithdrefnau ysgrifenedig cyfredol ar gyfer cyflwyno'n gwasanaethau a gwireddu'n cyfrifoldebau

- **Polisïau a gweithdrefnau ar gynnal busnes a darparu gwasanaethau**

Dylid cynnwys gweithdrefnau ar gyfer ymdrin â cheisiadau am wybodaeth.

- **Iechyd a Diogelwch**
- **Datganiad ar y Polisi Cyflogau**

Datganiad o’ch polisi a'ch gweithdrefnau ynghylch tâl, gan gynnwys eich dull o ymdrin ag unrhyw dâl sy'n gysylltiedig â pherfformiad ac o ddarparu cymorth i staff sydd â chyflogau is.

- **Polisïau a gweithdrefnau ar adnoddau dynol, gan gynnwys polisïau recriwtio a chyflogaeth**

Os yw swyddi gwag yn cael eu hysbysebu fel rhan o'ch polisïau recriwtio, trefnwch fod manylion y swyddi gwag presennol ar gael yn rhwydd.

- **Polisïau cydraddoldeb ac amrywiaeth**

Cynhwyswch weithdrefnau a chanllawiau ynglŷn â chydraddoldeb ac amrywiaeth.

Cynhwyswch yn y dosbarth gwybodaeth hwn godau ymarfer, memoranda cyd-ddealltwriaeth, protocolau rhannu gwybodaeth a gwybodaeth debyg. Bydd nifer o bolisïau, er enghraifft cydraddoldeb ac amrywiaeth ac iechyd a diogelwch, yn ymwneud â darparu gwasanaethau a chyflogi staff.

- **Safonau’r Gymraeg**

Cynhwyswch fanylion am sut rydych yn cydymffurfio â gofynion Deddf yr Iaith Gymraeg 1993 a/neu Fesur y Gymraeg (Cymru) 2011.

- **Cyfarwyddiadau / gweithdrefnau ariannol sefydlog**
- **Rheolau sefydlog**
- **Polisïau a gweithdrefnau Gwasanaeth i Gwsmeriaid a Chwynion**

Rhowch fanylion am safonau ar gyfer darparu gwasanaethau i'ch cwsmeriaid, gan gynnwys gweithdrefnau cwyno. Cynhwyswch weithdrefnau sy'n ymdrin â cheisiadau am wybodaeth a gweithredu'r cynllun cyhoeddi.

- **Diogelu data / rheoli cofnodion / Gwarcheidwad Caldicott**

Cynhwyswch bolisïau diogelwch gwybodaeth, cynlluniau ffeiliau lefel uchel, cadw, dinistrio ac archifo cofnodion, polisïau diogelu data (gan gynnwys rhannu data a defnyddio CCTV) a chyfrinachedd cleifion.

- **Rheoli ystadau**

- **Cyfundrefnau a pholisïau codi tâl**

Darparwch fanylion unrhyw gyfundrefnau statudol ar gyfer codi tâl. Fel rhan o'ch polisïau codi tâl, cynhwyswch daliadau a godir am wybodaeth rydych chi'n ei chyhoeddi fel rhan o'r drefn a nodwch yn glir pa gostau rydych chi'n eu hadennill, ar ba sail rydych chi'n gwneud hynny, a sut rydych chi'n eu cyfrifo.

Os ydych yn codi ffi am drwyddedu ailddefnyddio setiau data, nodwch yn eich arweiniad i wybodaeth sut rydych chi'n cyfrifo hyn ac a ydych chi'n codi'r tâl o dan y Rheoliadau Ffioedd Ailddefnyddio ynteu o dan ddeddfwriaeth arall. Chewch chi ddim codi ffi ailddefnyddio os ydych yn trefnu bod y setiau data ar gael i'w hailddefnyddio o dan y Drwydded Llywodraeth Agored.

## Dosbarth 6 – Rhestrau a chofrestrau

Cyhoeddwch wybodaeth a geir mewn rhestrau a chofrestrau sy'n cael eu cadw ar hyn o bryd yn unig.

- **Unrhyw wybodaeth y mae'n ofynnol yn gyfreithiol ar hyn o bryd ichi ei chadw mewn cofrestrau sydd ar gael i'r cyhoedd**
- **Rhestr o'r prif gontractwyr / cyflenwyr**
- **Cofrestrau asedau**

Does dim rhaid ichi gyhoeddi'r holl fanylion o'r holl gofrestrau asedau. Er hynny, trefnwch fod lleoliad tir cyhoeddus ac asedau sy'n adeiladau a gwybodaeth am y nodweddion allweddol sydd fel arfer yn cael ei chofnodi ar gofrestr asedau ar gael, ynghyd â rhywfaint o wybodaeth arall o gofrestrau asedau cyfalaf.

- **Cofrestr asedau gwybodaeth neu'r tebyg**

Os ydych chi wedi paratoi cofrestr asedau gwybodaeth at ddibenion Rheoliadau Ailddefnyddio Gwybodaeth y Sector Cyhoeddus 2015, cyhoeddwch ei chynnwys.

- **CCTV**

Manylion lleoliadau unrhyw gamerâu gwyliadwriaeth CCTV agored sy'n cael eu gweithredu gennych chi neu ar eich rhan. Chi ddylai benderfynu ar lefel y manylion sy'n briodol. Gellid gwneud hyn fesul adeilad neu yn ôl lleoliadau daearyddol mwy cyffredinol e.e. codau post neu godau post rhannol, gan ddibynnu ar y materion diogelwch a godir.

- **Unrhyw gofrestr o fuddiannau rydych chi'n ei chadw**
- **Cofrestr o Roddion a Lletygarwch a ddarperir i aelodau'r Bwrdd ac uwch bersonél**
- **Cofnod datgeliadau**

Os ydych yn cynhyrchu cofnod datgeliadau sy'n nodi'r wybodaeth a ddarperir mewn ymateb i geisiadau rhyddid gwybodaeth a cheisiadau'r EIR, trefnwch ei fod ar gael yn rhwydd. Cadwch gofnodion datgeliadau fel arfer da.

| **Dosbarth 7 - Y gwasanaethau rydyn ni’n eu cynnig**<br><br>Gwybodaeth am y gwasanaethau rydyn ni’n eu cynnig, gan gynnwys taflenni, canllawiau a newyddlenni. |
| --- |
| Yn gyffredinol, mae’r dosbarth hwn yn estyniad ar y dosbarth cyntaf o wybodaeth, ‘Pwy ydyn ni a beth wnawn ni’. O dan y dosbarth hwn, gallwch fanylu ar y gwasanaethau a ddarperir gennych. Fel man cychwyn, rhowch restr neu restrau o'r gwasanaethau sy'n dod o fewn eich cyfrifoldeb sy'n gysylltiedig â manylion y gwasanaethau hynny.<br><br>• **Gwasanaethau clinigol a ddarperir a /neu a gomisiynir**<br>• **Gwasanaethau anghlinigol**<br>• **Gwasanaethau y mae gennych hawl i adennill ffi ar eu cyfer ynghyd â'r ffioedd hynny**<br>• **Taflenni gwybodaeth i gleifion a llyfrynnau a newyddlenni eraill**<br>• **Sut i wneud cwyn; trefniadau Gweithio i Wella GIG Cymru**<br>• **Cyngor a chanllawiau**<br>• **Cyfathrebu corfforaethol a hysbysiadau i'r cyfryngau** |